# RHEOL O gyſarwyddyd iw harſer wrth ym- weled ar Clâſ.







# Rheol o gyfarwyddyd im harfer wrth ymweled ar Clâf.

*Yr offeiriad ar i fynediad cyntaf ir lle y byddo y Clâf yn gorwedd a ddywed.*

**TAngneddyf fyddo yn y ty hwn, ac i bawb y sydd yn trigo ynddo,** Amen.

*Yno gan nessau at y Clâf y gostwng efe ar ei liniau at sawl oll a fyddo gydag ef, ac a ddywed.*

Gweddiwn.

Arglwydd trugarhâ wrthym.
Christ trugarhâ wrthym.
Arglwydd trugarhâ wrthym.



**In Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd. Sancteiddier dy enw. Deued dy deyrnas. Bid dy ewyllys ar y ddaiar megis y mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni yn dyledion fel y maddeuwn ni in dyledwyr. Ac nac**

arwain ni i brofedigaeth : Eithr gwared ni rhag drwg. Canys ti biau 'r dernas, a'r nerth, a'r gogoniant yn oes oesoedd, Amen.

## Gweddiau dros y Clâf.



Arglwydd Ddûw Holl-alluog yr hwn nid wyt yn dirmygu ochneidiau calonnau drylliog cystuddiedig, derbyn yn gweddiau yrhai yr ydym yn eũ hoffrwn i'th ddwyfol fawredd : Edrych i lawr attolwg i ti ar dy wasanaeth-wr hwn sydd ofidus gan ddolur. Bydd iddo yn dŵr amddiffin yn erbyn holl ruthrau ei elynnion : Ti biau obriodoldeb, ô Arglwydd, yn wastad drugarhau ac iachau y rhai drylliedig ô galon : Arglwydd attolygwn i ti ddanfon iddo ddiddanwch dy gymmorth yn ei gyfingderau hyn, mal pa un bynnag a wnêl a'i byw ai marw, y llawenycho ynot ti, trwy Jesu Grist eni Arglwydd, Amen.

## Vn arall.



Arglwydd edrych i lawr o'r nefoedd, golyga, ymwel, ac esmuytha ar dy wâs clwyfus hwn. Edrych arno à golwg dy drugaredd Dyro iddo gyssur, a diogel ymddiried ynot, amddiffin êf rhag perigl y gelyn, a chadw êf mewn tangneddyf dragwyddol, a diogelwch, trwy Jesu Grist ein Hargiwydd, Amen.

Gweddi

Gweddi arall.



Uw yr unig noddfa ymmhôb anghenion a chyfyngderau, yr unig gymmorth yn amser gwendid a llescedd, derbyn attolwg ein gweddiau gostyngedig, y rhai'r ydym yn eu hoffrwm gar dy fron tros dy wasanaethwr clwyfus hwn: ymwel ag ef o Achubudd bendigedig megis yr ymwelaist ag Ezechias, â mam gwraig Petr, ac â gwâs y Captaen: felli ymwel a dyro i'r Clâf hwn ei gynnefin iechyd od yw dy fendigedig ewyllys a'th fodlonrhwydd di, neu ddyro iddo râs i gymeryd felly dy ymweliad, fel y bo iddo yn ô'l diweddu y fuchedd boenedig hon, allu gorphywys gyd â thi yn y fuchedd dragwyddol trwy Jesu Grist, i'r hwn gyd a'r Tâd a'r Yspryd glân y byddo pob gallu, a gogoniant ag Arglwyddiaeth yr awr' hon ag yn dragwyddol, Amen.

Gweddi arall.

O Arglwydd IESU GRIST yr hwn ywt iechyd pob dyn byw, a bywyd tragwyddol y rhai ydynt yn marw mewn ffydd, nyni dy ostyngedig weision wedi ymgynnull ymma gan fôd yn ddiogel genym na all y peth a orchmynner i'th ddwylo di fôd yn golledig; ydym yn gorchymyn i ti o nefol Dâd dy wasanaethwr ymma sydd ostdug gan ddolur: gan attolwg iti gryfhau ei enaid ef

yn erbyn pôb mâth ar brofedigaethau, ai gadw
ai amddiffin rhag holl gynllwynion Diafol: nid
oes ynddo ddim haeddedigaethau, na dim arall
iw roddi trosto neu hyder arno, ond yn unig dy
ddirfawr a'th dyner drugareddau di. Fe ath
aned ti Arglwydd trugarog er ei fwyn ef: Ti
â weddiaist, ac â ymprydiaist er ei fwyn ef:
Ti â bregethaist ac â athrawiaethaist er ei
fwyn ef: Ti â newynaist ac â sychedaist er ei
fwyn ef: Ti â wnaethost bob gweithredoedd
da er ei fwyn ef: Ti â ddioddefaist boenau
anguriol, ac arteitheau: Ac yn ddiweddaf a
roddaist dy werthfawroccaf gorph i farw,
a'th waed iw dywalle ar y groes er ei fwyn
êf. Yr awr hon, o Arglwydd, yr awr hon o dru-
garoccaf Achubwr, bydded yr holl bethau hyn
yn fuddiol ac yn dycciamus, yrhwn a roddaist ti
iddo, yr hwn a roddaist hyd yn oed dyhun tro-
sto. Golched a glanhaed dy waed ti aflendid a
brynti ei bechodau ef, bydded dy gyfiawnder di
yn cuddio ac yn gorchguddio ei anghyfiawnder
ef: Bydded haeddedigaethau dy ddiodde=
faint chwerw yn iawn tros ei bechodau ef.
Dyro iddo râs na byddo ffydd ac iechydwri-
aeth yn dy werthfawroccaf waed byth yn am=
heûs ac yn pallu ynddo, ond bôd yn gadarn
ac yn ddiyscog: na lescao gobaith o druga-
redd a bywyd tragwyddol byth ynddo ef:
nad oero cariad byth ynddo: Ac yn ddiwed=
daf, na orchfyger gwendid y cnawd gan ofn
marwolaeth Caniadha, o caniadha druga=
roccaf Achubwr pan fwrio angeu y cêl tros
lygaid

lygaid ei gorph ef, allu o lygaid ei enaid graffu yn ddiyscog ac edrych arnat ti: pan ddygo angeu oddiwrtho ei varabl, ai leferydd er hynny allu 'oi galon lefain a dywedyd, i'th ddwylo di Arglwydd y gorchmynnâf fy enaid. Felly Arglwydd Iesu tyred yn fuan, Amen, Amen.

*Ymddroidion cyssurol a mysyrdodau iw hadrodd wrth y Clâf gan yr Offeiriad yn sefyll yn ei ymyl.*

GAredig frawd (neu chwaer) y mae yn rhaid i ti ystyried fod Duw yn danfon y cerydd hwn ar dy gorph megis meddiginiaeth i iachau dy enaid, ddrwy dy gymmell di (yr hwn wyt glâf o bechod) i ddyfod trwy edifeirwch at Grist y meddig i feddiginiaethu dy enaid. Y mae yn rhaid iti ystyried nad yw y clefyd trymma ar a allech i odef ddim iw gyffelybu ar poenau, ac a'r arteithiau a ddioddefodd Iesu Grist dy Achubwr trosot. Ac am hynny gan iddo ef ddioddef cymmaint dros dy brynnedigaeth di, dy ddylêd tithau iw ddwyn yn oddefus ychydig glefyd iw fodloni yntau. Ti â ddylit gofio fod dy glywf a'th ddolur pan fo mwyaf ei angerdd yn llai o lawer nag a haeddodd dy bechodau. Canys dy gydwybod dy hun a ddywaid iti haeddu o honot ar law ddiwwaeth nâ'r hyn yr wyt yn awr yn ei oddef: Ystyriaeth o hyn a ddylei ddyscu iti ymattal rhag grwgnach ac anfodlonrhwydd yn erbyn Duw, ond wrth fynied dy amrywiath

aml bechodau rhoddi fawr ddiolch iddo na ddialeddir arnat â chospedigathau trymmach o lawer. Meddwl mor ewyllysgar fyddei y rhai damnedig yn uffern i oddef y boen lleiaf sydd arnat ti tros fil o flynyddoedd tan ammod bôd iddynt obaith yn unig o esmwythdra oddiwrth ei poenau tragwyddol yn ôl cynnifer o flynyddoedd. Gan hynny gan mai trugaredd Dduw ydiw gael o honot yn hytrach dy geryddu nath ddifetha, ti a ddylit ddwyn yn oddefus ei gospedigaeth amserol ef oherwydd yr amcanfryd yw dy achub oddiwrth ddamnedigaeth dragwyddol. Y mae yn rhaid iti feddwl nad oes dim yn dangos iti yn yr achosion hyn ond y cyfriw bethau ac a ddigwyddodd fynychaf i'th frodyr ynghrist, y rhai ag hwy yn weision anwyl a ffyddlon i Ddûw tra fuont fyw yma ar y ddaiar, ydynt yn awr yn Seintiau gwynfydedig, a gogoneddus gyd ag ef yn y nefoedd, megis Iob, Dafydd, Ioseph, Lazarus ac eraill. Hwy â fuont tros amser yn griddfan tan y cyffelib faich, ond y maent hwy yr awr hon wedi eu gwaredu oddiwrth ei holl ddruení, trallodau, ac adfydwch. Ac felly yn yr unffunyd cyn nẽmawr o ddyddiau (os arhosi yn oddefgar wrth yr Arglwydd) i'th rydheir dithau hefyd o'th glwyf a'th ddolur, naill ai trwy roddi i ti dy gynefin iechyd fel i Iob gynt, neu (yr hyn sydd well o lawer) drwy dy dderbyn megis Lazarus ir orphwysfa nefol: Yn ddiweddaf cofia na roddes Dûw mo honot yn nwylo dy gaseion

i'th

i'th gospi, eithr efe (dy Dâd caredig) a'th gerydda ai drugarog law ei hûn. Y brenin Dafydd wedi cael ar ei ddymuniad ddewis ei gospedigaeth ei hûn, a ddewisodd dderbyn ei gerydd ar law Dduw yn hyttrach nag mewn môdd arall yn y byd, gan ddywedyd: Gâd i mi syrthio yn awr yn llaw yr Arglwydd (canys aml yw eu drugareddau ef) fel na chwympwyf yn llaw dŷn; Ac am hynny ych dy'êd chwi yw cymerûd y cystûdd hwn yn groesawys gan ei fôd yn dyfôd oddiwrth law Dduw, oddiwrth yr hwn nyni â wyddom nad oes dim ond daioni yn dyfod. Dy gystudd hwn sydd yn dyfod oddiwrth law dy nefol Dâd, yrhwn nis danfonei bythoni bai ei fôd yn gweled mai anghenrhaid, a buddiol yw i ti.

Yn ail y mae yn rhaid i ti ystyried oddiwrth pa ddrygau ac aflwydd y daw marwolaeth i'th achub ac i'th ryddhau. Yn gyntaf, hi a'th rydd hâ oddiwrth gorph llygradwy yr hwn a gaid mewn pechod, ac ni ddichon wneuthur dim amgen ond pechu. Yn ail hi a'th ryddhâ oddiwrth dy ymcanion ofer, a'th swriadau anfuddiol, yrhai ydynt ddrygionus bob amser, a daroslyngedig i aflendid, rhagrith melusdra, swyddymgais, gwâg-ogoniant drwg-fwriad, dial, cybydd-dra, trachwant, meddwdod, anghymedrolder, tyngu, annuwioldeb, balchder, gorthrymder, a mil or cyffelyb drueni, a'r rhain y trallodir ein eneidiau truein tra yr arhosant o fewn carchar-dai ein cyrph. Yn drydydd, marwolaeth a'th rhydda di rhag pechu, ac a wna ddiben ar bob adfydwch a ddigwydd i be-

 chod

chod, yn gymmaint ag yn ôl marwolaeth in bydd dim tristid mwyach, na llefain, ac na bydd dim dolur mwy, canys Duw a sych ymmaith bob deigr oddiwrth ein llygaid. Yn bedwerydd drwy farwolaeth i'th ddidolir oddiwrth gyfeillach dynion drygionus ac in phreswyli mwy ym Melheck, ac ni thrigi ym mhebyll Cedar. Ac yn ddiweddaf oll, lle mae yn corph helbulus yma yn byw mewn byd o ddrygioni, yn gymmaint ac na ddichon yr enaid truan edrych allan ar llygad, na gwrando ar glust, na chyffwrdd ar llaw, nac arogleu ar ffroenau, nac archwaethu ar tafod yn ddyberigl, rhag digwyddo iddo ryw brofedigaeth, neu lygredigaeth bydded hyspys iti y gwaredir dy enaid trwy farwolaeth rhag y caethiwed yma ac y gwisgir dy gorph llygredadrwy ag anllygredigaeth, ar marwol hwn ag anfarwolaeth. O dedwydd a thraddedwydd yw'r farwolaeth honno yn yr Arglwydd yr hon an gwared a oddiwrth fyd mor ddrygonus ac anrhyddâ oddiwrth y cyfryw gorph o gaethiwed a llygredigaeth.

Yn drydydd y mae yn rhaid iti ystyried pa lesâd â ddwg marwolaeth dduwiol. Yn gyntaf hi â ddwg dy enaid i fwynhau cyfundeb digyfnewing gyd a'r fendigedig Drindod mewn tragwyddol ddedwyddwch a gogoniant. Yn ail, hi a drosglwydda dy enaid allan o drueni y byd hwn, ac odd wrth gymdeithas pechaduriaid i ddinas y Duw byw y Hierusalem nefol, a chymanfa llawer myrddiwn o Angylion ac a ysprydoedd y cyfiawn, ac at Jesu cyfryngwr yt

Testa=

Testament newydd. Ac yn drydydd, marwolaeth a ddyru dy enaid mewn cwbl-gyflawn feddiant o'r holl etifeddiaeth a'r dedwydd a addawodd Christ iti yn ei air, neu a bwrcasodd trosot ai waed. Dyma 'y llesâd ar dedwyddwch i'r hwn ith ddwg marwolaeth fendigedig. Ac am hynny da fydd iti pan nesao amser dy ymadawiad, yn ewyllysgar ac yn llawen orchymyn a rhoddi dy enaid i gadw i ddwylo Jesu Grist dy vnig Jachawdwr a'th brynnwr.

*Wedi gorphen y cyngor, yr Offeiriad, ar gynnlleidfa gyd ag ef, a benliniant ac a weddiant mal hyn.*

O Drugarog Dâd yr hwn ywt Arglwydd a rhoddwr bywyd, ag ir hwn y perthyn digwyddiadau marwolaeth, nym dy blant wedi ymgynnull yma ynghyd, ydym yn cydnabod nad y'm ni deilwng oherwydd ein amrafael bechodau i ofyn ar dy ddwylaw ddim bendith i ni ein hunain chwaethach bod yn erfynwyr tros eraill at dy fawredd di: Etto o herwydd gorchymmyn o honot i ni weddio tros ei gilydd, yn enwedig tros y Claf, ac a addewaist y byddei gweddiau y Cyfiawn yn gymeradwy gyd â thi. Gan hynny mewn vfydddod ith orchymmyn ac ymddiried yn dy raslawn addewid yr ydym yn hyderu bôd yn eiriolwyr gostyngedig at dy ddiwyfol fawredd tros hwn yma ein anwyl frawd (neu chwaer) yr hwn yr ymwelaist ag ef a chospedigaeth dy dadol law dy hûn gan attolwg i ti er mwyn Jesu Grist, ac er haeddedigaeth ei ofidus farwolaeth

chod, yn gymmaint ag yn ôl marwolaeth ni bydd dim tristid mwyach, na llefain, ac ni bydd dim dolur mwy, canys Duw a sych ymmaith bob deigr oddiwrth ein llygaid. Yn bedwerydd drwy farwolaeth i'th ddidolir oddwrth gyfeillach dynion drygionus ac ni phresswyli mwy ym Melheck, ac ni thrigi ym mhebyll Cedar. Ac yn ddiwaddaf oll, lle mae yn corph helbulus yma yn byw mewn byd o ddrygioni, yn gymmaint ac na ddichon yr enaid truan edrych allan ar llygad, na gwrando ar glust, na chyffwrdd ar llaw, nac aroglau ar ffroenau, nac archwaethu ar tafod yn ddyberigl, rhag digwyddo iddo ryw brofedigaeth, neu lygrediaeth byddid hyspys iti y gwaredir dy enaid trwy farwolaeth rhag y caethiwed yma ac y gwiscir dy gorph llygradwy ag anllygredigaeth, ar marwol hwn ag anfarwolaeth. O ddedwydd a thraddedwydd yw'r farwolaeth honno yn yr Arglwydd yr hon an gwareda oddiwrth fyd mor ddrygionus ac anrhyddâ oddwrth y cyfryw gorph o gaethiwed a llygredigaeth.

Yn drydydd y mae yn rhaid iti ystyried pa lesâd â ddwg marwolaeth dduwiol. Yn gyntaf hi â ddwg dy enaid i fwynhau cyfundeb digyfrwng gyd a'r fendigedig Drindod mewn tragwyddol ddedwyddwch a gogoniant. Yn ail, hi a drosglwydda dy enaid allan o drueni y byd hwn, ac odd wrth gymdeithas pechaduriaid i ddinas y Duw byw y Hierusalem nefol, a chymanfa llawer myrddiwn o Angylion ac a yspyrydoedd y cyfiawn, ac at Iesu cyfryngwr yr

Testa-

Testament newydd. Ac yn drydydd, marwolaeth a ddyru dy enaid mewn cwbl-gyflawn feddiant o'r holl etifeddiaeth a'r dedwydd a addawodd Christ iti yn ei air, neu a bwrcasodd trosot ai waed. Dyma 'y llesâd ar dedwydd-dwch i'r hwn ith dwg marwolaeth fendigedig. Ac am hynny da fydd iti pan nesao amser dy ymadawiad, yn ewyllyscar ac yn llawen orchymyn a rhoddi dy enaid i gadw i ddwylo Iesu Grist dy unig Iachawdwr a'th brynnwr.

*Wedi gorphen y cyngor, yr Offeiriad, ar gynnlleidfa gyd ag ef, a benliniant ac a weddiant mal hyn.*

O Drugarog Dâd yr hwn ywt Arglwydd a rhoddwr bywyd, ag ir hwn y perthyn dîgwyddiadau marwolaeth, nym dy blant wedi ymgynnull yma yngbyd, ydym yn cydnabod nad y'm ni deilwng oherwydd ein amrafael bechodau i ofyn ar dy ddwylaw ddim bendith i ni ein hunain chwaethach bod yn erfynwyr tros eraill at dy fawredd di: Etto oherwydd gorchymmyn o honot i ni weddio tros ei gilydd, yn enwedig tros y Cláf, ac a addewaist y byddei gweddiau y Cyfiawn yn gymeradwy gyd â thi. Gan hynny mewn ufydddod ith orchymmyn ac ymddiried yn dy raslawn addewid yr ydym yn hyderu bôd yn eiriolwyr gostyngedig at dy ddiwfol fawredd tros hwn yma ein anwyl frawd (neu chwaer) yr hwn yr ymwelaist ag ef a chospedigaeth dy dadol law dy hûn, gan attolwg i ti er mwyn Iesu Grist, ac er haeddedigaeth ei ofidus farwolaeth

ai ddioddefaint (yr hwn a ddioddefodd efe tro=
sto ef) bardynu â maddeu iddo ei holl bechodau,
yn gystad y pechod hwnnw ym mha vn y lluni=
wyd ac y ganed ef ar holl gamweddau ar tro=
seddau, y rhai erioed hyd y dydd hwn ar awr
â wnaeth ar feddwl, gair, neu gweithred, yn
erbyn dy ddwiwol fawredd. Tafl hwynt y-
maith o'r tu cefn i ti O Arglwydd a bwrw hwynt
oddiwrthit cyn belled ag yw'r dwyrain oddi=
wrth y Gorllewin. Gollwng hwynt tros gôf,
na ddyro hwynt iw erbyn ef. Golch hwynt y=
maeth yngwaed Crist fel na s gweler mwyach,
a gwared ef oddiwrth yr holl farnedigaethau
dyledus iddo am ei bechodau, na byddont mwy
yn cythryblu ei gydwybod, nac yn codi mewn
barn yn erbyn ei enaid, a chyfrif iddo gyfiawnder
Ies. Crist drwy'r hwn yr ymddangoso efe yn gyfi
awn yn dy olwg di. Ac yn ei ddirfawr ofid ar hyn
o amser O Arglwydd, ymchwanega ei ffydd, ac
naill ai yscafnhâ ei ddolur, neu ddyro iddo ymch-
wanego amynedd i oddef dy wynfydedig ewyl-
lys di ath fodlonrhwydd ; Ac na ddyro arno
Arglwydd ddaionus amgenach baich nac y gal-
lo drwy'r nerth a roddech di iddo yn hawdd ei
ddwyn. Cyfod ef i fynu attat dy hun ag ochen=
eidiau a gruddfan anhraethadwy. Gwna id=
do yn awr gydnabod beth yw gobaith ei alwedi-
gaeth, a pheth yw rhagorol fawredd dy druga-
redd ath nerth tuag at y rhai â gredant ynot, ac
yn ei wendid ef dangos di O Arglwydd dy
nerth. Oh achub ei enaid ef a cheryddha Sa=
tan a gorchymmyn i'th Angelion sanctaidd
gastellu o'i amgylch iw amddeffyn yn erbyn
pob

pob drwg fwriadau a phrofedigaethau, ac i yrru ymaith ym mhell oddiwrtho bôb mâth ar ysprydion drygionus, a niweidus: Pâr iddo fwy-fwy gasâu y bŷd ymma, a deisyfu ei ddatod a bôd gyda â Christ. A phan ddêl yr awr ddaionus honno y bwriedaist di alw am dano allan or bywyd presennol hwn dyro iddo rás i orchymmyn ei enaid yn heddychol ac yn llawen i'th drugarog ddwylo di, a derbyn ef ith drugaredd, a dyged dy Angelion gwynfydedig ef ith deyrnas nefol, yno i ganu mawl a chaniadau ysprydol i'th enw bendigedig gyd a'r gwynfydedig Saint a'r Angelion yn dragywydd, Amen.

*Yna yr Offeiriad yn sefyll i fynu â ddwg ar gof ir dyn Clâf y. 5. peth hyn fydd yn canlyn.*

Y Ngyntaf, na ddaeth Crist i alw y cyfiawn ond pechaduriaid i edifeirwch; mai pechadur yw efe, ac am hynny y daeth iw alw ef.

2 Yn ail, mae Crist oedd wir oen Duw yr hwn a ddaeth i dynnu ymmaith bechodau'r byd: fôd ynddo ef bechodau lawer, ac am hynny y daeth i dynnu ymmaith yr eiddo ef.

3 Yn drydydd, fôd Crist yn noddfa i bawb a'r y fydd yn flinderog, ac yn llwythog: mai blinderog yw efe, ac am hynny fôd Crist yn nodded iddo.

4 Yn bedwerydd, mai Crist yw yn cyfiawnder ni ac yn agos at bawb â alwo arno, ei fôd

efe yn awr yn galw, ac ambynny fôd Christ yn agos atto ef.

5 Yn bummed, os byw y mae, byw y mae ir Arglwydd, os marw y mae marw y mae ir Arglwydd, pa vn bynnag â wnêl ai byw ai marw, eiddo yr Arglwydd ydyw.

*FFûrf ar gyffes iw harfer ir Clâf ar ddull ymofynion, o ba rai y pwngc cyntaf sy ynghylch proffes (neu gyfaddefiad) ein ffydd, ar ail ynghylch cyffessu pechodau.*

Quæstiwnau ynghylch ffydd.

A Wyt ti yn credu yn Nuw Tâd Holl-alluog Creawdwr nêf a daiar? Ac yn Jesu Grist ei vn mâb ef ein Harglwydd? A'i genhedlu or yspryd glân? a'i eni o Fair forwyn? Iddo ddioddef tan Pontius Pilatus, ei groeshoelio, ei farw, a'i gladdu? Descyn o honaw i vffern, a'i gyfodi y trydydd dydd ac escyn ir nefoedd, a'i fôd yn eistedd ar ddeheu-law ddûw Tâd Holl-alluog: ac odd yno y daw efe yn niwedd y byd i farnu byw a meirw? A wyt ti yn credu yn yr yspryd glân, yr Eglwys lân Gatholic, Cymmun y Sainct, madeuaint pechodau, Adgyfodiad y Cnawd, a bywyd tragwyddol gwedi angeu?

Atteb.

Hyn oll yr wyf yn ei gredu yn ddilys.

1 A ydych chwi yn cyfaddeu i'r Holl-alluog Dduw wneuthur ohonoch gamweddau dirfawr, a gorthrwon drwy ych holl einioes?

2 A ydych chwi yn cydnabod bechu o honoch mewn balchder calon, gan fod yn anniolarhgc

i roddwr

i roddwr pob daioni am ei ddonniau?

3 A ydych chwi yn cydnabod bechu o honoch drwy faichder mewn dillad, balchder o gryfder, glendid pryd, cyfoeth, a'ch bôd am hynny yn gofyn i Dduw faddeuaint?

4 Bechu o honoch drwy genfigen wrth glywed cannol, neu wybod fod yn caru rhyw un arall yn fwy na chwychwi am yr hyn yr ydych yn gofyn i Dduw faddeuaint?

5 Ddarfod ichwi bechu drwy lid, a cheisio ymddial, wedi ymgyffroi yn ddiachos, am yr hyn yr ydych yn gofyn i Dduw faddeuaint?

6 Bechu o honoch drwy ddiogi, drwy drymder meddwl, mewn gwâg feddyliau ac oferfwridau, drwy esceuluso gweddi, a mysyrdod, am yr hyn yr ydych yn gofyn i Dduw faddeuaint?

7 Ddarfod i chwi bechu drwy gybydd dra, drwy chwant anghyfreithlawn i gyfoeth, a golûd bydol, ac na thosturiasoch wrth gyflwr truenaid megis y dylasech, am yr hyn yr ydych yn llefain ar Dduw am faddeuaint?

8 Bechu o honoch drwy annigonol fwytta ac yfed, drwy fynych ormodded, am yr hyn yr ydych yn gofyn i Dduw faddeuaint?

9 Bechu o honoch drwy aflendid buchedd, meddyliau anniwair ac ymadroddion serth anfoesawl, am yr hyn yr ydych yn gofyn i Dduw faddeuaint?

10 Na ddarfu i chwi gynghori y rhai oedd arnynt eisieu cyngor, ddyscu yr annwybodus a maddeu ir sawl a wnaethant ich erbyn; am yr hyn yr ydych yn llefain ar Dduw am faddeuaint?

11 Ddarfod

11 Ddarfod i chwi bechu drwy droseddu y dêg gorchymmyn, na charasech Dduw yn fwyaf dim, ac na addolasoch ef yn ddiledrith, ac na anrhydeddasoch ei enw sanctaidd, eithr ai cymmerasoch yn ofer ar lwon diddefnydd, na chadwasoch yn sanctaidd ei Sabbothau ef, ac na roesoch ddyledus barch i'ch rhieni, a'ch llywodraethwyr, chwi a ddugasoch ddigasedd dybryd ac a fuoch fyw yn anniwair, chwi a ddygasoch dda eich cymmydog à enllibiasoch ei enw da ef, ac a chwennychasoch yr hyn oedd wrthwyneb i gyfraith Dduw; am yr hyn oll yr ydych chwi yr awr' hon yn gofyn i Dduw faddeuaint?

12 A ydych chwi yn cydnabod na ddarfu i chwi arfer donniau yr yspryd glân i anrhydedd Duw, dawn deall, dawn cyngor, dawn doethineb, dawn cadernid, dawn gwybodaeth, dawn ofn; am yr hyn yr ydwyt yn gofyn i Dduw faddeuaint?

*I'r qw.estiwnau ymma a ofynno yr offeiriad, attebed y dyn Clâf gan ddywedyd ar ei ôl ef mal hyn.*

Atteb y Clâf.

AM yr holl bechodau a'r camweddau hyn, neu bôb mâth a'r bechod arall gwybodedig neu guddiedig a wneuthym erioed er pan i'm ganed hyd y dydd heddiw yr wyf fi a chalon edifeiriol yn gofyn i Dduw faddeuaint, ac yn attolwg iddo fyngwared rhag fyngelyn ysprydol a maddeu imi fy holl bechodau trwy ryglyddon ei fâb Iesu Grist fy unig Iachawdwr

ddwr

dwr a'm Prynwr, yn enw yr hwn y gweddiaf megis i'm dyscodd. Ein Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd, &c.

*Yna y gweddia yr Offeiriad mal hyn.*

Gwrandawed yr Arglwydd arnat yn nydd cyfyngder, Enw Duw Jacob a'th amddeffynno. Anfoned iti gymorth o'r cyssegr, a nerthed di o Sion. Rhodded it wrth fodd dy galon, a chyflawned dy holl arfaeth. Ymddiried rhai mewn cerbydau, ac eraill mewn meirch, ond nyni a gofiwn enw yr Arglwydd ein Duw. Cadw Arglwydd. gwrandawed y brenin nefol arnom yn y dydd y llefom. Gosoded yr Jesu mâb Duw byw ei ddioddefaint ei hun rhwng dy bechodau di, ar barnedigaethau i ddyfod, Amen.

*Wedi gorphen y weddi yr Offeiriad a â rhagddo yn ei gwæstiwnau, ac a ofyn i'r dyn Clâf fel hyn.*

A Ydwyt ti o eigion dy galon yn ewyllysio yngymmodi a Duw yn Jesu Grist ei wynfededig fâb ef a'th fendigedig Achubwr dithau a'th gyfrwngwr: yr hwn sydd yr awr hon yn eistedd ar ddeheu-law Dduw yn y nefoedd ac yn eiriol arno ef tros dy enaid ti.

Atteb.

*Ydwyf.*

A wyt ti in in credu yn ddiammeu, ac yn gobeithio bôd yadwedig drwy vning haeddedigaethau

thau y far wolaeth a'r dioddefaint gwaedlyd a ddioddefodd dy Iachawdwr Iesu Grist trosot? heb fod gennit ddim gobaith Iechydwriaeth yn dy ryglyddon dy hyn, nac mewn cyfryngau eraill, neu mewn creaduria, dd? drwy fod yn gwbl-siccr gennit, nad oes vn enw arall tan y nêf drwy'r hwn y mae yn rhaid dy iachau, ond enw Iesu Grist?

Atteb.

*Ydwyf.*

A wyt ti o eigion dy galon yn maddeu pob sy-rhaedd, a chamwedd, a wnaed neu a gynnigwyd iti gan nêb rhyw ddŷn?

Atteb.

*Ydwyf.*

A wyt ti yn fodlongâr ac o ewyllys dy galon yn gofyn maddeuaint i'r sawl y gwnaethost gam a hwynt mewn modd yn y byd ar feddwl, gair, neu weithred?

Atteb.

*Ydwyf.*

A wyt ti yn bwrw allan oth galon bob drwgfwriad, a digasedd a ddeliaist yn erbyn nêb, fel y gallech ymddangos ger bron Iesu Grist mewn cariad perffaith a chymmodlonedd?

Atteb.

*Ydwyf.*

A ywyn ddrwg gan dy galon droseddu o honot gyfreithiau a gorchmynnion Duw, esceuluso ei ddwywol wasanaeth ef a'i addoliant, a chanlyn cymmaint ar drachwantau dy gnawd dy hun, ac oferddigrifwch y byd?

Atteb.

Atteb.

*Y mae yn ddrwg gennif.*

A fyddit ti fyw o hyn allan yn dduwiolach, ac yn sancteiddiach, pe rhy gei bodd i Dduw estyn dy enoies?

Atteb.

Gwnawn drwy nerth Duw.

*Ymayr Offeiriad a rybuddia y Claf i fod yn wiliadwrus, ac yn ddyfal i wrando ac i gredu y peth a ddywedo ef wrtho fel hyn.*

Anwyl frawd bydded hyspys iti, mai Gwenidog Jesu Grist wyfi, ac un o'r rhai y rhoes Crist iddynt wenidogawl allu, ac awdurdod, i'th ollwng yn rhydd oddiwrth dy bechodau trwy rym yr awdurdod yr awn sydd yn ddywedyd: J bwy bynnag y maddeuoch eu pechodau, maddeuwyd iddynt, J bwy bynnag ir atalioch hwy a attaliwyd.

Gwybydd gan hynny (Garedig frawd) os yw y broffes fydd a wnaethost yn bur, ac yn fywiol: a'r gyffes a wnaethost o'th bechodau yn dyfod o'th galon yn edifeiriol ac yn ddiragrith yna y bydd y geiriau a adroddwyt wrthit yn y fan yn tueddu yn iniawnwir ac yn ddiball i'th iechydwriaeth dragwyddol. Atteb fi gan hynny a yw dy fydd yn fywiol, a'th edifeirwch yn gywir ac yn ddiledrith?

Atteb.

Yr wyf fi yn credu yn ddiymmod holl byngciau y ffydd Gristianogol: ac y mae yn ddrwg gennyf o eigion fyngha lô tros fy holl bechodau.

*Yna y gesyd yr Offeiriad ei lawddehau ar ben y dyn Clâf ac y traetha iddo y gollyngdod hwn.*

EIn Harglwydd Iesu Grist yr hwn â adawodd feddiant iw Eglwys i ollwng pob pechadûr a fyddo gwir-edifeiriol ac yn credu ynddo ef o'i fawr drugaredd a faddeuo iti dy gamweddau: a thrwy ei awdurdod ef a gannadhawyd i mi i'th ollyngaf o'th holl bechodau yn enw'r Tâd, a'r mâb, a'r yspryd glân, Amen.

*Yn ôl y gollyngdod y dyry yr Offeiriad i'r Clâf Osculum Pacis (gusen tangneddyf) gan ddywedyd.*

YR Arglwydd Iesu a gatwo dy gorph a'th enaid i fywyd tragwyddol, Amen.

Gweddiwn.

O Drugarocaf Dduw yr yn ôl lluosawgrwydd dy drugaredd ydwyt felly yn dileu pechodau y rhai sydd wir edifeiriol, fel nad ydwynt yn eu cofio mwy, agor lygad dy drugaredd ar dy wasanaethwr yma, yr hwn o wir ddifrif sydd yn dymuno gollyngdod a maddeuaint. Adnewydda ynddo garedig Dâd beth bynnac a lescawyd trwy ddichell a malis y cythraul, neu drwy ei gnawdol ewyllys ef hun ai wendid. Cadw a chynnal yr aelod clwyfus hwn o fewn undeb dy Eglwys: Ystyria wrth ei wir edifeirwch, derbyn ei ddagrau, ysce=

fnhâ

fnhâ ei ddolur môdd i gwelech di fôd yn orau ar ei lês: Ac yn gymmaint ai fôd ef yn rhoddi cwbl o'i ymddiried yn vnig yn dy drugaredd di, na liwia iddo ei bechodau or blaen, eithr cymmer ef i'th nodded trwy ryglyddon dy garedicaf fâb Jesu Crist, Amen.

*Darfyddo ir Offeiriad mal hyn gyflawni ei swydd yn cymmodi y dyn Clâf â Duw ynghrist, yn nessa peth efe a ddylei ei gynghori ef fel y cynghorodd* Esay, Ezechias, *i osod i dy mewn trefn drwy wneuthur ei ewyllys, ai lythr Cymmun onis gwnaethpwyd eusys, ac ynghylch hynny o beth y dywed yr Offeiriad wrth y dyn Clâf fel y canlyn.*

Anwyl frawd, dy gynghori yr wyf i wneuthur dy ewyllys cyn i'th glefyd drymhau, ac ith gof wanhau. Ni wna hynny nath bellhau di oddiwrth dy dda, na byrhau dy einioes ddim cynt, ond ysgafnhau llawer ar dy feddwl drwy dy ryddhau o lawer o drafferth pen fyddo rheitiaf iti gael llonyddwch. Oblegit darfyddo vnwaith gosod dy dŷ mewn trefn, e fydd haws iti osod dy enaid mewn trefn, âc ymgymmwyso i gymeryd dy daith tu ar wlâd nefol.

Anwyl frawd, o chynyscaeddodd Duw dydi ag helaethrwydd o dda bydol y mae yn ddyledus arnat yn arwydd oth ddiolchgarwch i Dduw fôd yn haelionus ac yn syber wrth y tlawd. Oherwydd y neb a roddo i'r tlawd sydd yn rhoddi echwyn i'r Arglwydd; ac o herwydd mai bendigedig yw'r dyn a roddo i'r tlawd ar

anghenus, yr Arglwydd a'i gwared ef yn amser trallod. Yr Arglwydd ai ceidw ac a'i bywhâ, gwynfydedig fydd ar y ddaiar: ni ddyry yr Arglwydd ef wrth ewyllys ei elynion. Yr Arglwydd a'i nertha ef ar ei glâf wely, ac a gyweiria ei holl wely ef yn ei glefyd, fel y tystiolaetha yr yspryd glân.

Anwyl frawd os dy gydwybod a ddwg ar gôf iti gymmeryd o honot ddim trwy drawsder, a'th fod yn ei attal rhag-llaw oddiar wraig weddw, neu blant ymddifaid, neu oddiar nêb arall pwy bynnac fyddo, bydded diogel iti hyn, os tydi nis telì drachefn fel gwnaeth Zaccheus i'r gwir berchennog y da, a'r tîr â ddygaist (o bydd cymmaint ar dy helw) ni elli wir edifarhau. ac heb wir edifeirwch, ni elli fod yn gadwedig, nac edrych ar Grist yn ei wyneb pan ymddangosech ger bron ei orseddfaingc ef. Ystyria beth a wnelych; oblegyd y mae dy iechydwriaeth yn gaeth ac mewn enbydrwydd o ran y pwngc hwn.

*Y Clâf wedi mal hyn esmwythau ar ei gydwybod drwy wneuthur ei lywodraeth a chael gollyngdod o'i bechodau, yr Offeiriad â ddylei ei gyngori i gymeryd y Sacrament bendigedig o swpper yr Arglwydd iw gadarnhau ef ei ffydd, a gwanhau y Cythraul yn ei gyn llwynion: gan mai y Sacrament hwn yw megis y geilw Cymmanfa gyngor Nicen ef Viaticum ymdeithfwyd yr enaid ar ei ffordd ir nefoedd.*

*Wedi darfod y Cymmun aed yr Offeiriad rhagddo yn ei weddiau fel y mae yn canlyn.*

O Arglwydd Dduw yr hwn orchmyn=
naist i ni weddio tros ei gilydd yn gystal
mewn clefyd ac iechyd gan addaw ben=
dith yn y cyfing-derau mwyaf, nyni bechaduriaid
truein ydym yn ymddangos ymma ger bron dy
fawredd di tros dy wasanaeth wr gofidus hwn
ymweledig gan dy law di: Attolygwn iti Ar-
glwydd daionus selio a siccrhau yn ei galon ef
drwy dy lân yspryd faddeuaint o'i holl bechodau.
Pâr i feluscHwaith a phereidd flâs ffydd fywi=
ol ddiflasu a iachu ar yr holl lygredigaethau a=
flan sydd ynddo fel i byddo ei enaid a'i gorph we=
di ei bresentio iti yn bûr ac yn ddifrycheulyd yn-
gwaed dy Fâb. Arglwydd na ddyro yn ei erbyn
ef yr hyn a ddywedodd neu a wnaeth ar fai eri=
oed drwy holl ystod ei fywyd, eithr dercha ef
mewn gobaith: Dywaid yn gyssyrus wrth ei e-
naid, arwain ef drwy dy yspryd i dryssordŷ dy
drugareddau. Cymmer ymmaith oddiwrtho
ddychryn, a thrymder marwolaeth. Gwrthneba
gynllwynion ei elynnion ysprydol y rhai a ymo-
sodasant o amgylch ogylch iddo: Dyro iddo
nerth yn erbyn rhuthrau y cythraul fel y caffo
fuddugoliaeth berffaith. Bydded y gwybodaeth
o honot ti yr awr hon yn ffrwythlawn ynddo, ac
yn fuddiol iddo. Cryfhâ ei ffydd ef fel y gallo
gael gwîr edifeirwch, a chyflawni tu ag attat
ufydd-dod dyledus, a diolchgarwch di-ragrith
am beth bynnac â osodech arno. Dyro iddo (O
Arglwydd) brawf o'th ogoniant ac o'r llawe=
nydd â baratoaist iddo, mal drwy gyssur oddi-

wrtho y gallo ymdrechu ymdrech têg gan gadw y ffydd, a phan ddêl amser ei ymadawiad, ymwrthod yn ewyllysgar a'r byd presennol drygionus hwn, a bywgyd a thi yn dragywydd. Caniadhâ hyn o Arglwydd er mwyn Iesu Grist ein unig Arglwydd a'n Iachawdwr, Amen.

O Rasusaf Arglwydd a charedigcaf Dâd, yr hwn wyt weithiau yn rhoddi iechyd i beri i ni yn well dy gydnabod di a'th ymgeledd tu ag attom, weithiau yn danfon clefyd i'n galw yn ôl i well-hau yn buchedd darfydddo i ni bechu yn dy erbyn: nyn dy ostyngedig weision, tros dy wasanaethwr hwn, a phawb eraill a gystuddir mal hyn, ydym yn attolwg i ti yn ostyngedig na ddwg ef i'r farn dôst am ei fuchedd a'i helynt â aeth heibio, eithr gan gofio dy drugaredd maddeu iddo ei bechodau, a thrwy yr iawn a dalodd dy fâb rhyddhâ ef oedd wrth dy farnedigaethau. Yscafnhâ, o Arglwydd yr holl gyfingderau y rhai a ddichon naill ai gorthrymder ei bechodau wrth ei cofio, neu chwerwder ei ofidiau wrth i dioddef, neu ddichell y gelyn cyffredin, neu ofn marwolaeth eu dwyn arno, ac na ddôd mwy arno, o Arglwydd na ddôd mwy arno nag â allo ei ddwyn. Dywed yn gyssurus wrth ei enaid ef fel y gwnaethost i'r rhai oll â geisiasant ei iechyd corphorol gennit ti. Cyfarwydda, a chynnyrcha ei galon ef idderbyn y Tadol gerydd yma, a'r grassawn ymwel iad mewn amynedd, ffydd, cussur, a gwir ddarostyngeiddrwydd i'th wynfededig ewyllys i fyw,

i fyw, neu i farw. Gosot, o Arglwydd wrth enaid dy greadur truan hwn sancteiddiad ac iechus feddiginiaethau dioddefaint, marwolaeth, ac adgyfodiad dy fâb, yn erbyn dychryn, ofn, gwendid, petrusedd, ac annobaith. Cymmer ymmaith oddiwrtho angerdd ei ddolur, esmwytha ei ofidiau, cyweiria ei wely, sych ei holl ddagrau oddiwrth ei lygaid, ac ysgafnhâ ar ei gydwybod gythryblus. Cyssura ef ar awr ei ymadawiad pan alwech am dano, agor iddo ddrysau trugaredd, lleda dy freichiau iw dderbyn i'th nodded fel pan ddêl yr amser, yr elo iw fedd mewn heddwch gan ymgynnal wrthit ti mewn sicerwydd o râd-faddeuaint am ei holl bechodau, a gobaith o adgyfodiad wynfydedig. Ac yn y cyfamser, o Arglwydd, gwastadhâ ei synwyrau ef fel na byddont yngwibio, neu yn traws-redegan i gynnyrfiadau afreolus. Cadw iddo ei gôf yn ddiball fel nath anghofiodi, ond beunydd a phôb awr meddwl o honaw am danat yr hwn wyt angor ei ddiogelwch ef. Cadw ei dafod rhag ymleferydd a gwâg siaradach, a'i galon rhag pob dychryn, ac amddeffyn ef tan dy adenydd. Bydd drûgarog wrthym ni y rhai megis cyd-aelodau ysprydol o'r un corph ydym yn addoli dy enw sanctaidd, ac yn dymuno dy ddwyfol gymmorth ith wasanaethwr hwn; a dysced yr Esampl ymma i ni fwy gostyngeiddrwydd, ofn, a pharch, tu ag attat ti yr awr hon ac yn dragywydd. Gwrando ein gweddiau, o Arglwydd, er mwyn Jesu Grist, Amen.

*Ymodd y gorchymmyn yr Offeiriad y dyn Clâf i ddwylaw Duw, fel y canlyn.*

DUw Tâd yr hwn a'th greawdd, Dûw fâb yr hyn a'th brynnodd, Dûw yr yspryd glân yr hwn a dywalleodd ei râd ynot a'th gymmortho yn dy holl brofedigaethau, ac a'th dywyso ar hyd y ffordd i dangneddyf tragywyddol.

Atteb.

*Amen.*

Crist yr hwn â fu farw trosot a'th gatwo rhag pob drwg.

Atteb.

*Amen.*

Crist yr hwn a'th brynnodd, a'th gryfhao ym mhôb profedigaethau.

Atteb.

*Amen.*

Crist yr hwn a'th garodd mor anwyl a drugarhao wrthit.

Atteb.

*Amen.*

Crist Iesu yr hwn â gyfododd oddiwrth y meirw y trydydd dydd â gyfodo dy gorph a'th enaid yn adgyfodiad y cyfiawn.

Atteb.

*Amen.*

Crist yr hwn sydd yn eistedd ar ddeheulaw Dûw yn y nefoedd, a'th dygo i lawenydd tragwyddol.

Atteb.

*Amen*

*Amen.*

Dûw Tâd ath catwo, ac a'th yngeleddo, Dûw tâb a'th gymmorth, ac a'th nertho: Yspryd bendigedig yr Arglwydd Ddûw, yr yspryd glân fyddo gyd a thi: y Drindod gyssegr-lân a'th gymmorthwy mewn enioes ac angeu.

Atteb.

*Amen.*

Dûw â ganiadhao iti le ym monwes Abraham.

Atteb.

*Amen.*

Dûw â ganiadhao iti weled dy Achubwr bendigedig mewn cyflwr gogoniant.

Atteb.

*Amen.*

Dûw â ganiadhao fôd dy farwolaeth yn werthfawr yn ei olwg ef, yn yr hwn y mae i ti orphywys yn dragywydd.

Atteb.

*Amen.*

*Aed yr Offeiriad rhagddo fel y canlyn, gan ddywedyd.*

Drugaroccaf Dâd yr ydym yn gorchymmyn iti dy wâs hwn, gwaith dy ddwylaw dy hun: yr ydym yn gorchymmyn iti ei enaid ef yn rhyglyddon Crist Iesu ei brynnwr. Derbyn o Arglwydd, dy greadur dy hun: maddeu attolwg beth bynnac â droseddwyd drwy wendid dynol: A gorchymmyn i'r Angelion ei ddwyn ef i dir tragwyddol râs.

 Atteb.

Atteb.

*Amen.*

Cadw Arglwydd enaid dy wâs fel y cedwaist Noah yn y diluw.

Atteb.

*Amen.*

Cadw o Arglwydd enaid dy wâs fel y ced=waist Lot rhag tân Sodom.

Atteb.

*Amen.*

Cadw o Arglwydd enaid dy wâs fel y ced-waist Iob yn ei holl adfyd.

Atteb.

*Amen.*

Cadw o Arglwydd enaid dy wâs fel y ced=waist yr Israeliaid rhag nerth Pharaoh a gor=thrymder yr Æipht.

Atteb.

*Amen.*

Cadw o Arglwydd enaid dy wâs rhag y=stryw Satan fel y cedwaist Ddafydd rhag ei holl elynnion.

Atteb.

*Amen.*

Cadw o Arglwydd enaid dy wâs fel y ced waist Ddaniel rhag safn y llewod.

Atteb.

*Amen.*

Cadw o Arglwydd enaid dy wâs fel y ced=waist y tri llangc rhag y fflammau tanllyd.

Atteb.

*Amen.*

Cadw

Cadw o Arglwydd enaid dy wâs fel y cedwaist Elias rhag y gau brophwydi â geisient ei ddifetha ef.

Atteb.

*Amen.*

Cadw o Arglwydd enaid dy wâs, a gwared ef fel y gwaredaist dy Apostolion Paul a Barnabas allan o garchar ar hanner nôs.

Atteb.

*Amen.*

Oddiwrth y tywyllwch eithaf.

*Gwared ef o Arglwydd.*

Oddiwrth felldith tragwyddol.

*Gwared ef o Arglwydd.*

Drwy dy enedigaeth.

*Gwared ef o Arglwydd.*

Drwy dy ympryd a'th weddiau.

*Gwared ef o Arglwydd.*

Drwy dy newyn a'th syched.

*Gwared ef o Arglwydd.*

Trwy dy groes a'th ddioddefaint.

*Gwared ef o Arglwydd.*

Trwy dy ddescynniad i uffern.

*O Arglwydd gwared ef.*

Trwy dy adgyfodiad o feirw y trydydd dydd.

*O Arglwydd gwared ef.*

Trwy dy escynniad ir nefoedd.

*O Arglwydd gwared ef.*

Trwy dy eisteddiad ar ddehen-law y Tâd mewn gogoniant.

Amen.

I'Th drugarog ddwylo di o nefol Dâd yr ydym yn gorchymyn enaid dy wasanaethwr yn awr yn terfynu; Cydnebydd attolwg ddafad oth gorlan dy hun, oen o'th braidd dy hun: Derbyn ef ymreichiau dy drugaredd, gan wybod nas gall y peth a orchymynner i'th ymgeledd di fod yn golledig: O drugaroccaf iachawdwr derbyn attolygun i ti ei yspryd ef mewn heddwch, Amen.

*Y dull a'r modd y bendithia yr Offeiriad y dyn Clâf pan fyddo ym mron terfynu.*

IEsu Grist a'th ollyngo oddiwrth dy holl bechodau.

Atteb.

*Amen.*

Iesu Grist a faddeuo yr holl ddrwg a wnaethost drwy dy glywed, trwy dy weled, trwy dy gyffyrddiad, a thrwy dy archwaethiad pa fodd bynnac.

Atteb.

*Amen.*

Iesu Grist yr hwn a fu farw trosot a ddileo dy holl gamweddau.

Atteb.

*Amen.*

Iesu Grist yr hwn sydd yn dy alw a'th dderbynnio iw deyrnas nefol.

Atteb.

*Amen.*

Yr Arglwydd ath fendithio ac a'th gatwo:

llewyrched yr Arglwydd ei wyneb arnat: derchafed yr Arglwydd ei wyneb arnat, a rhodded it adgyfodiad llawen i fywy tragwyddol.

Atteb.

*Amen.*

Ymado o enaid cristianogawl yn enw Duw Tâd yr hwn a'th greawdd, Duw fâb yr hwn a'th brynnodd, Duw yr yspryd glân yr hwn a'th sancteiddiodd, un Duw byw ac anfarwol, i'r hwn y byddo gogoniant yn oes oesoedd, Amen.

*Gweddi iw harfer pan fyddo Cristion o ddyn ar derfynu, neu eusys wedi terfynu.*

HOll-alluog a thragwyddol Dduw, yn gymmaint a rhyngu bodd iti gymmeryd dy wasanaethwr hwn allan o drueni byd pechadurus i'th nefol deyrnas, bendithier o Arglwydd dy enw di byth ac yn dragywydd: pâr i ninnau, ni attolygwn iti yrhai ydym etto yn aros ar y ddaiar fôd yn feddylgar o'n marwoldeb, fel y rhodiom o'th flaen di mewn cyfiawnder a sancteiddrwydd holl ddyddiau ein bywyd: A phan ddêl amser ein ymadawiad oddi ymma, y gallom orphywys ynot fel y mae ein gobaith fôd dy wasanaethwr hwn modd y gallon ni gyd â'n brawd hwn, a phawb eraill â ymadawsant ar fŷd mewn gwir ffydd yn dy enw bendigedig gyd-lawenychu yn dy dragwyddol a byth-barhaus deyrnas, trwy Iesu Grist ein Arglwydd, *Amen.*

Moliant i Dduw.



A Brintywyd yn Llundain gan
THOMAS HARPER.
1629.

